E. L. Parry

Y Farw wedi ei chodi yn fyw
Atebydd
Anerchiad
Beth ydyw yr Efengyl
Beth yw Mormoniaëth
Y Gloriau
Gau Brophwydi
Hanau
Cwcw y Don
Omddiffyniad y Saint
Adolygiad

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"CANYS MYFI YR ARGLWYDD NI'M NEWIDIR," &c.—Malachi.

"A rhoi yn wir a osododd DDW yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, yr ail PROPHWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, RHYWIOGAETHAU TAFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded ANATHEMA."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn PROPHWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon.

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.

1845.

# RHAGYMADRODD.

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, HWN YDWYF." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly ? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

HANES

# YMFUDIAD Y SAINT

I

# GALIFORNIA;

YN GYNNWYSEDIG

MEWN DAU LYTHYR O NEW ORLEANS, AMERICA, UN ODDIWRTH CAPT. D. JONES, A'R LLALL ODDIWRTH MR. THOS. JEREMY, (GYNT O LANYBYDDER),

AT

## OLYGYDD "UDGORN SEION."



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

PRIS DWY GEINIOG.

# AT Y DARLLENYDD.

DYMUNAF hysbysu y darllenydd, mai achos cyhoeddiad y Llythyron canlynol yn lyfryn, yw, o herwydd eu bod yn ormod o faint i'w gosod yn UDGORN SEION, fel ag oedd yr ysgrifenwyr yn bwriadu. Mae yr hanes a gynnwysant yn ddifyrus ac adeiladol iawn, ac wedi ei chyd-wau â dysgeidiaeth werthfawr ynghylch llawer o bethau tra buddiol, yn neillduol i'r rhai a fwriadant ymfudo. Tra mae y Captain mewn llawn waith gyda'i ganlynwyr anwyl ar y ffordd i wlad bell, nis gall yn ei fyw anghofio ei frodyr a'i chwiorydd sydd ar ol yn Nghymru, eithr cymmera drafferth neillduol i ddesgrifio iddynt bob peth perthynol i'w brodyr ymadawedig, fel y byddo iddynt gael eu cysuro a'u dyddanu yn ei absennoldeb.

Pan oedd Capt. Jones fel hyn yn gofalu am danom, nis gallaf lai nâ gwenu wrth weled caredigrwydd y diafol yn ceisio ei efelychu. Rhoddaf yma gopi o lythyr a dderbyniais ychydig o flaen Capt. Jones, dyben pa un oedd twyllo y Saint. Mae wedi ei ysgrifenu ar bapyr a ddefnyddia yr Odyddion, ac yn cynnwys eu harwyddlun; a cheisir efelychu *post marks* arno, trwy ei stampio â sel ysgrifenydd Odyddol, ar yr hon y mae gair lled debyg i "Llansamlet." Dyma y llythyr:—

"New Orleans, Gulf of Mexico, Feb. 27, 1849.

"Fy Anwyl Frawd yn yr Arglwydd,—Y mae yn dda genyf i allu eich hysbysu ein bod wedi tirio yn ddiangol yn New Orleans, wedi byr fordaith gysurus. Y mae gofal amlwg am danom, yr hyn a brawf yn eglur i'r byd wirionedd ein crefydd, er cymmaint o ddweyd yn ei herbyn sydd gan y lliaws gau-grefyddau'r byd; a dichon y daw y llythyr hwn i law hefyd braidd yn wyrthiol; os felly, cyhoeddwch ef gerbron y cyhoedd, a dywedwch yn Gath ac yn Ascelon am ofal rhagluniaethol ein Tad nefol am danom. Yr ydym yn myned oddiyma i Nauvoo, ar lân yr afon Mississippi, yn nhalaeth Illinois, ac oddiyno i Council Bluffs, yn nhalaeth Missouri. Dangosodd angel mewn breuddwyd y directions atoch;

hysbyswch hyn hefyd i bawb. Dywedwch wrth bawb o'r brodyr ein bod yn iach a chysurus, ac yn argyhoeddi y byd fel ydym yn myned yn y blaen; a bydd ein rhif yn filoedd erbyn y cyrhaeddom ben ein taith: a chyn hir, dadymchwelwn holl deyrnasoedd y ddaear, a byddwn fyw fil a dau cant a thrugain o flynyddoedd wedi i hyny ddod i ben. 'Does genyf ddim amser i ysgrifenu llawer atoch, am fod fy ngofal yn fawr.

"Ydwyf, yr eiddoch yn serchog,
"Eich tad yn yr Arglwydd,"
"CAPT. DAN JONES.

"To Mr. W. Llewellyn, Merthyr."

Mae y cyfarwyddyd oddiallan fel hyn:—"Mr. J. Walter Llewellyn, at Mr. Ed. Morris, Tai-yr ysgol, Llansamlet, near Swansea, Glamorganshire, Wales." Ni ddywedaf ragor am dano, ond cynghoraf y Saint i beidio collfarnu pob Odydd o herwydd drygioni rhai; a bydded iddynt ymdrechu o hyd i fod yn gyfrwys fel y sarff, a diniwed fel colomenod.

Gwelir wrth lythyron fy mharchus frodyr, pa faint o au-brophwydi yn Nghymru, fydd yn fuan yn gorfod cywilyddio am yr hyn a brophwydasant yn gelwyddog am y Saint. Bydd y cyfan a brophwydwyd, er hyny, yn ddaioni mawr; oblegid, caiff yr onest eu calon gyfleusdra i adnabod pwy yw eu ffryndiau.

J. DAVIS.

*Merthyr, Mai* 26, 1849.

---

☞ Wedi i ni argraffu oddeutu pymtheg cant o'r llythyron canlynol, gwelsom lythyr arall o New Orleans, dyddiedig Ebrill 30, 1849, oddiwrth Mr. Thomas Richards, gynt o'r Mynydd, Merthyr, at ei frawd Mr. William Richards, o'r un lle, yn hysbysu fod y gweddill o'r Saint a aeth ymaith yn y llong "Hartley," oddeutu wythnos neu ragor ar ol y llong arall, wedi cyrhaedd yn iach a diangol ar y 29ain o Ebrill, ac wedi cael mordaith ddymunol. Dyweda fod dau blentyn wedi eu geni, a phedwar o'r morwyr wedi eu bedyddio, ar y môr; ac hysbysa fod Capt. Jones a'i Saint wedi myned rhag eu blaen i St. Louis, ychydig cyn eu dyfodiad hwy i New Orleans.

# YMFUDIAD Y SAINT.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH CAPT. D. JONES AT OLYGYDD "UDGORN SEION."

*New Orleans, Ebrill* 18, 1849.

ANWYL FRAWD DAVIS,—

YN ol fy mynych addewid i'r Saint anwyl a adewais ar ol yn Nghymru, rhoddaf hanes ein taith dros y weilgi hyd yma. Diau fod llawer o chwedlau wedi cael eu taenu drwy Gymru am danom, ac o brophwydoliaethau am ein boddiad, &c.; am hyny, erfyniaf arnoch hysbysu drwy eich "Udgorn" mai gau yw yr oll hyd yn hyn—ein bod ni etto yn fyw, er mai yr ochr draw i'r môr oddiwrthych chwi. Gobeithiaf y credant nad o *fyd yr ysbrydoedd* y daeth y llythyr hwn. Hefyd, ni throdd y Captain y llong i Cuba, a gwerthu y Saint yn gaethion, hyd yma, megys ag y prophwydwyd drwy "Seren Gomer, &c., y gwnaethai. Ffeithiau fel hyn a brofant pwy ydyw y gau brophwydi.

Ond at hanes ein mordaith. Gan fy mod yn ysgrifenu i sylw llawer ag ydynt yn bwriadu ein dilyn hwyr neu hwyrach, pa rai y dymunwn eu dedwyddwch, caniatewch i mi fanylu yn y pethau mwyaf addysgiadol, fel yr ennillant hwy oddiwrth esiamplau. Yn ganlynol i'r hanes a glywsoch am danom o Lynlleifiad, hysbysaf ddarfod i ni cyn hwylio, sef y Sul cyntaf wedi myned i'r llong, sefydlu ein hunain yn Ganghen ymfudol, neu nofiadwy ar y dyfnder, etto i fod mewn ystyr arall yn gangen sefydlog, a dethōlwyd yr amrywiol swyddwyr i lanw y gwahanol gylchoedd perthynol. Cynnaliasom gwrdd Saint, cyfranwyd y sacrament, a chawsom brofion amlwg fod cymmeradwyaeth i'n haddoliad gan y Nefoedd, drwy bresennoldeb yr Ysbryd Glân yn ei ddylanwadau hyfryd; a chawsom brofion amlwg fod y gelyn, megys yn nyddiau Job, wedi dyfod yno hefyd, drwy iddo feddiannu un chwaer, hyd nes yr oedd wedi ei hanmhwyllo, achosi iddi ysgrechain, a thraethu pethau annynol a rhegfeydd dychrynllyd; eithr ni chadwodd ei mwstwr yn hir, ond drwy arddodiad dwylaw yr henuriad, a gweddi y ffydd, gwelodd ein Tad yn dda i selio addewid ei Fab "i'r rhai a gredant," ar fôr a thir, sef—"Yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid;" ac O, mor werthfawr oedd y fendith y tro hwn.

Dosparthwyd y llong yn wyth o ddosparthiadau, yn ol rhif y teuluoedd. Gosodwyd henuriaid i arolygu dros bob dosparth, i ofalu fod pawb yn ddidderbyn wyneb yn gwneyd ac yn cael cyfiawnder, yn magu ac yn meithrin cariad ac undeb, ac yn neillduol i weled ar fod pawb yn cadw y lleoedd yn lân ac iachus. I'r

hyn, trefnwyd fod i ddau bob boreu godi o flaen y lleill ar gylch, a golchi y llawr, &c., yn lân, a'i sychu. Yr wyth llywydd hyn, ynghyd â thrioedd ereill, sef William Morgans, Merthyr, a Rice Williams a William Davies, Rymni, ei gynghorwyr, i gyfansoddi cynghor i drefnu pob materion tymmorol ac ysbrydol. Fel hyn y rhag-barotoisom drwy gydsyniad dieithriad.

Ar ddydd Llun, y 26ain o Chwefror, oddeutu dau o'r gloch prydnawn, hwyliasom o'r porthladd, a chanodd yr holl Saint, yn nghyda'r delyn, "Ffarwel y Saint" wrth fyned o'r dock. Eu lleisiau peraidd a adlesient drwy'r ddinas, nes dwyn sylw a pheri syndod i filoedd o edrychwyr, y rhai a'n dilynent ar hyd y làn fel pe wedi eu swyno Hyd yma dilynwyd ni gan ein hanwyl a'n ffyddlawn frodyr, William Phillips, Merthyr, Abel Evans, Eliaser Edwards, ac amryw henuriaid ffyddlawn ereill, ynghyd â David Jeremy o Brechfa. Y brodyr hyn, wedi dangos pob caredigrwydd arall a allent, a phob cynnorthwy, fel anwyl garedigion eu hanwyliaid hyd làn y bedd, a eiddigeddent am y mwyaf am ddangos etto ychwaneg o'u cariad, drwy brynu oranges, a'u taflu atom i'r llong, hyd y gallent ei chyrhaedd. Cwympiad yr oranges i'r môr cyn ein cyrhaedd, a brofodd ein bod yn rhy bell i siglo dwylaw â'n gilydd mwy. Yr ysgariad olaf hwn â hwy, yn unig a allodd gynhyrfu ffynnonell y dagrau erbyn ein gwaethaf. Erbyn hyn, braidd yn ddiarwybod, yr oll a welem o'n hol oedd eu napcynau, fel baneri yn chwifio yn yr awel, mewn iaith yn uchelfloeddio o galon gur, "Yn iach, yn iach! i forio yr eigion mawr i Seion hoff;" tra yr oll a glywent hwy yn ol oedd adleisiad calonau cynhes yn dod gyda'r awel oddiar y dwr, "Yn iach, yn iach! Brydeinig dir," &c. Meddyliem fod, nid yn unig dynion estronol, ond holl natur hefyd, wedi ymlonyddu i syllu ar yr olygfa, a gwyntoedd Chwefror wedi troi yn awelon haf o'n plaid. Dan deimladau annesgrifiadwy, llusgwyd ni gan ddwy agerlong fawr o olwg y ddinas; a chyn y nos ymsiglai ein llong megys bwth ar ymchwydd tonau y môr. Trodd yr agerlongau yn ol ar ol ein hebrwng oddeutu 30 milltir, a chyfnewidiodd yr olygfa yn dufewnol arnom ninnau, Yn awr elai rhai i gynneu tânau, berwi dwfr, gwneyd tê, &c.; tra ereill, mwy prudd eu bron gan glefyd y môr, a ymlwybrent tua'r gwely. Pan ddaeth wyth o'r gloch, a'r llong dan lawn hwyliau—y gwynt o'r gorllewin, a phob peth mewn trefn hyd y gellid—cynnaliwyd cwrdd gweddi deuluaidd, ac aeth pawb i orwedd, eithr nid nemawr i gysgu; ac er nad oedd y gwynt yn ystormus, na'r môr yn arw, etto yr oedd yn ddigon garw i wneyd braidd bawb mor glaf, fel nad anghofiaf y noson hono yn hir; er na chysgodd neb nemawr, etto neb lai na fy hunan ac ychydig o'r henuriaid ereill, gan ein bod ol a blaen yn cysuro ac yn cynnorthwyo y cleifion hyd y gallem drwy'r nos braidd. Hyfryd oedd goleu haul boreu dranoeth, a gwellhaodd amryw o'r cleifion; eithr ni allent gerdded eu hunain ar draws y deck braidd, heb eu harwain, yr hyn wasanaeth a'm cadwai i yn lled ddiwyd, ond nid llai pleserus na phob arweiniad arall iddynt. Y boreu hwn ymdrechais yn galed cyn llwyddo i gael rhai o'r

cleifion o'r gwely i anadlu awyr iach, gan mor ddifywyd yw y teimlad a grea clefyd y mor. Braidd na ddigiai ambell un wrthyf o herwydd fy nhaerni; eithr ni fynwn fy nacâu, serch gorfod cario aml un ar y deck; a chawn dâl da am fy nhrafferth trwy amynedd, wrth ganfod fod yr awyr iach ar lân yn eu gwellhau yn raddol a dieithriad, fel mai hawdd oedd canfod gwahaniaeth rhwng y rhai a ymollyngent i'w teimladau i aros yn eu gwely, a'r lleill a ymwrolent i ddod i'r awyr iachus ar y deck, iachad pa rai, ynghyd â'u tystiolaethau o hyny i ereill, a argyhoeddai ereill i'w hefelychu,—ac nid allaf annog gormod ar y rhai etto a ddel, i wneyd yr oll a allant i fyned ar y deck yn y cyffelyb amgylchiad; ac nid hir y bu, cyn i'r rhai a wrthodent waethaf i ddod gyda mi i'r lân, ddiolch mwyaf i mi, o herwydd i mi braidd eu gorfodi i ddod. Y dydd hwn, cefais ddigon o'r dynion i ddyfod i "Siop y Cwmpeini" (fel y galwent y store room lle cedwid yr ymborth, yr hwn oedd yn mhen ol y llong); a gwnaeth y tri prif lywydd, a'm hunan, siopwyr i bwrpas, i bwyso y gwahanol fwydydd canlynol i bob teulu, megys y dewisent; ac felly gallai pob un ei ddarparu fel a'r pryd y mynai. Rhanwyd i bob un dros 14 mlwydd oed y pwysau a ganlyn, a hanner hyny i bob un oedd dros flwydd a than 14; sef,—O fara caled, gwyn a da, 10 pwys; siwgr, 4 pwys; caws, 3 phwys; ymenyn, 3 phwys; resin, 4 pwys; rice, 2 bwys; coffi, 2 bwys; triagl, 4 pwys; tê, ¼ pwys. Yr ymborth hwn oedd o natur dda rhagorol, ac yn rhodd o eiddo y Llywydd Pratt, a'r hyn ni roddir gan neb ereill i fudolion; ac er mor drist eu gwynebau oedd rhai o'r benywod, etto parai yr olygfa ar y fath rodd iddynt ymlwybro tua'r siop yn siriol; a thra y sathrai y naill droed ar y llall, ac weithiau cwympai y naill ar y llall, gan ysgydwad y llong, etto meddaf, galwent am gymhorth "i godi'r isaf" dan chwerthin, a thrient wedy'n. Nid oedd derbyn wyneb am hyn, ond y goreu ei draed a gadwai ei ben i'r lân, a chydunai pawb fod y naill goes yn rhy fer, neu'r llall yn rhy hir, braidd bob cam.

Yn y prydnawn, gan fod y gwynt yn groes, safodd y llong drosodd ar gyffiniau yr Iwerddon, hyd nes yr oedd ei mynyddau serth a'i chreigiau danneddog yn bygwth ein llarpio, os deuem yn nes; a boddlawn oeddym oll i'r morwyr droi y llong yr ochr arall i'r gwynt, a'i thrwyn tuag at ororau ein hoff wlad ein hunain. Yr oedd amryw longau mawrion ereill yn ein golwg yn hwylio tua'r gorllewin, eithr yn hollol anhygoel cyflymai ein llong ni heibio iddynt oll o un i un, fel nas gwelem hwynt mwyach. Canol y nos, yr oedd y gwynt yn cynnyddu, a ninnau yn agos iawn i oleuadau Pen Gaergybi;—pawb braidd, oddieithr fy hunan a'r brawd Daniel Daniel, yn glaf.

— 28. Aethym ar y deck gyda thoriad y dydd, a'r cyntaf peth a dynodd fy sylw neillduol oedd Ynys Enlli, nid neppell oddiwrthym; a thu hwnt iddi dyrchafai mynyddau anferth sir Gaernarfon eu penau eiryawg, fel pe am yr uchaf a'r mwyaf awyddus i syllu, ar doriad y wawr, ai byw, ai wedi boddi, y plant a fagwyd ar eu bronau; ai a glywent heddyw ar y weilgi, hoff leisiau eu

meibion ymfudol yn adleisio megys gynt yn nghoedwigoedd a glenydd eu bro. Yn yr ymgyrch awyddus hyn, megys mam hiraethus yn mhlith ei merched, yr Wyddfa hoff uwch creigiau yr Eryri oedd hwyaf ei gwddf, ac uchaf ei phen i'r nef, yn syllu ar ein hol,—anghofiodd, gan ei hawydd, i ddiosg ei chap nos (eiryawg) i'n cyfarch: etto, nid oedd o'i meibion hyn, ond fy hunan, a feddai nerth i adleisio ei ffarwel famol yn ol, cyn y gostyngai ei phen hawddgar ar ol ei merched o un i un yn yr eigion dwyreiniol. Eithr nid arosai fy llestr i'm serch goffeiddio ei gwrthddrych (sef hoff wlad fy nhadau) yn hir, gan ei hawydd fel y milgi i gyflymu ei ffordd dros y berw brigwyn, fel pe yr ymchwareuai ar frigau ei gynddeiriog donau yn gampus ac eofn. Eithr nid y weilgi gwyrdd, er ei gyffroad—yr awyr lâs, er ei ffyrnigrwydd—nid hyd y nod cysur fy nghyd-deithwyr, nad faint oeddwn am hyny—nac ychwaith y ffarwel olaf i ororau'm gwlad,—a lanwai fy meddwl fwyaf; ond meddwl yr wyf yn ddwys am gyflwr ei thrigolion. Gwelwn fy hun yn awr â dyrnaid bach, megys ysgub y cwhwfai, o drigolion Gwalia, o hirbell yn syllu ar y wlad a elwir yn "ardd Cristionogaeth"—yn "wlad y Beiblau," yr hon y dyrchafa penau brigog ei haddoldai lliosog i'r nef, yn gofadail o'i sel frwdfrydig; ïe, wele hyn, a mwy etto: ac ai ffaith, ynte breuddwyd yw, fy mod ond wedi dianc ~~ar~~ y dwfr o blith fy mrodyr unwaed, â'm bywyd a chroen fy nannedd? Os ïe, paham hyn? Os nage, paham yr holl erlid, y difenwi, a'r cam gyhuddiadau a oddefais am flynyddau o'r wasg a'r pwlpudau? Paham gorfod gwylied fy annedd am wythnosau? Paham nad diogel fy einioes, ond rhwng gwylwyr? Paham gorfod ffoi yn ddirgel cyn yr amser? Paham na chawn ffarwelio â'm hanwyl wraig a'm baban? Diau nad am drosedd yn y byd; canys un, dwy, ïe, mwy na theirgwaith yr heriais undyn i brofi trosedd i'm herbyn. O, rhaid addef, nis gellir celu, mai erlidigaeth grefyddol a barodd yr oll; rhaid fod grym yn fy nghrefydd, pe bai dim arall i'w phrofi na hyn, ei bod wedi galiu cynhyrfu hen nwyd pob gau grefydd i'w heriid: nid o Dduw y tardda erlid, ac nid o hono ef y tardda y grefydd a erlidia * *. O, ïe, ffaith yw hyn, mai megys alltud o oror au'm gwlad y gwawria yr haul yn siriol ar fy mhen—megys alltud am ei grefydd y ceisia y gwyntoedd fy nghuro yn ol—fel alltud, gan ei frodyr a geisia lesoli, ymnertha fy llestr holl, fy nghastell, i'm hamddiffyn rhag peryglon, ac i ledu ei hwyliau i'r gwynt i'm cludo, fel ei chai, i Seion gartrefol yn ddiangol, megys milwr gorchfygol i'w artref. Y meddyliau hyn, yn ddiarwybod, a sugnodd fy serch a'm golygon tua'r gorllewin, i fyfyrio ar Seion a'i gogoniant, hyd nes drachefn, fel ffrwd lifeiriol, y daeth i'm cof, fod o'i phlant anwyl filoedd ar ol yn Nghymru—fod o'n cydgenedl hynaws yno luoedd a garent wir grefydd, pe caent gyfle. Troais unwaith etto fy wyneb i'r dwyrain, a'm hysbryd mewn gweddi ar i'r Duw a ddechreuodd y gwaith da hwn, ac a lwyddodd ei efengyl yn Nghymru, i wneyd ei weision yn rymus wyr, a hoff, fel meibion taran fawr, i'w hudganu yn uwch, nes deffro trigolion bro a bryn o gysgadrwydd gau-grefyddol, i'w chofleidio;—ar fod ei Ysbryd Ef, fel

parawl dân, yn coethi ei hufyddion. Ond erbyn hyn, rhwng cwrlid glâs yr awyr, ac uchel frig y tonau, braidd na chuddiwnt yr ardd fach lâs, sef y wlad a'm magodd, dan eu gorchudd. Addunelais na byddwn ddig am ddrwg a gefais yno, nad alltud bythol wyf, ond etto dros y dyfnder dof i dŷ fy ngharedigion, i dreio, os oes modd, eu dwyn yn fy nghol i Seion wiw mewn pryd. O, fy ngwlad! fy serch a gylyma am dy frodd hardd; dy lânau creigaidd ydynt "faen tynfa" oll; canys caraf les dy bobloedd. Efengyl nef ddyrchafo ei baneri gwynion ar bob bryn ac ael o fewn dy dir, a chwifio yn dy holl awelon. Ond etto, y mae o fewn dy dir, tu hwnt i'r oll a nodais, yn dra goruwch, tra hoff, a theg, ac er mor bell yn awr, yn nes na'r oll i'm calon! O, fy meddwl, paid, tyred, dychwel yn ol; paham y toraf linynau calon? Beth wnaf yn galw? yn ol ni ddaw. Wel, ynte, am eiliad, dy aden cwyd i'r gwynt, a gwledda yn ei chwmpeini. Yn awr engyl nef o gylch ei gwely sydd, yn sïo iddi gysgu; ei grudd yn goch, a'i gwen yn llon, fel pe y'm gwelai; estyna ei breichiau glân; cofleidia yn dŷn, fel pe bai ei hanwyl arglwydd yn ei chol; eithr nid yw ef yno, ond ei ddelw. O'r rhosyn bach, a'r unig un, braidd cyhyd ei oes â'r newydd loer, paham y'th adewais? Hyd y boreu hwn, fy anwylyd,* er it' y'm dilyn dros fôr a thir, a gwledydd lawer—er cydfwynhau yn llon o'm mynwes gur a chysuron—er aml waith i ti wneyd i'm anghofio byd a'i bethau, ac er mor dŷn y cedwaist ti allweddau'm calon am ddeg o flwyddi—er pawb a phob peth fu erioed hyd boreu heddyw, nes saethai'm meddwl ar dori'r wawr i'th ystafell wely, y cerais. O, na chai fy meddwl aros yma yn hwy, ïe, aros i ti ddeffroi? ond galar digon dwys oedd ymadael gynt—paham ei ail archolli? Ymwrola'm hysbryd; rhaid yw hyn er crefydd Crist—nid yw yn hir, ac nid yw yr ysgariad hwn heb ei wobr oesol. Chwi, engyl glân, gorchymynaf i chwi ofal fy ngwraig a'm baban; yn mlaen yn wrol af,—gofalwch am ei chynnal, hyd nes dychwelaf; gwerthfawr yw i'm henaid i, canys er fy mwyn boddlonodd; am hyny, neidia'r Wyddfa fawr i'r môr, cyn byth byth ei hanghofiaf;—i'th freichiau di, fy Nhad, cyflwynaf fi yr oll a feddaf. Un golwg etto—un cyfarchiad mwy cyn ymadawaf; ymgryma'm hysbryd uwch ei gorweddle: yn awr ymnertha i'r campwaith hwn! Ust! beth sy'n bod? p'le yr wyf? aie, ai ar yr eigion mawr? ïe, a galwad ar frys at y cleifion Wel, wel, crwydrais yn mhell; ond dychwelaf at fy stori. Nid oedd nemawr yn alluog i ddarparu bwyd heddyw; ond cytunodd Daniel Daniel a William Jenkins, a minnau, ar ddyfais i ddenu, drwy helpu amryw ar y deck; gwnaethom le cysurus i restr o'r benywod i eistedd yn yr awyr, ac ymroisom i wneyd gruel blawd ceirch iddynt, yr hyn a'u nerthodd yn fawr; ac felly, crochaned ar ol crochaned a ranasom iddynt ar gylch, ar yr ammod o'u bod yn aros i fyny i'w fwyta. Anhawdd darlunio y lles oedd hyn iddynt; a chynghorwn bawb i ddyfod â digonedd o flawd ceirch da, a bara

* Fel y sylwyd yn yr UDGORN yn ddiweddar, gwellhaodd Mrs. Jones mor gyflym, fel y gallodd fyned ar ol ei hanwyl briod, yr hwn mae yn ddigonebyg, sydd wedi ei gweled yn Council Bluffs erbyn hyn.—J. D.

ceirch, gyda hwynt, o herwydd cânt weled mai hyny a fydd oreu ei flas o bob peth ganddynt am yspaid.

Yn yr hwyr, yr oedd yr Iwerddon yn ein golwg; cynnyddodd y gwynt, fel y gorfuwyd lleihau y top sails i'r man eithaf, a thynu yr hwyliau ereill oll i mewn. Trowyd y llong a'i phen i'r deau am yspaid, ac yna yn ol ar y naill ochr drwy'r nos; ac ar y naill ochr, mwy na'r llall, yn ei byw nis gallasai orwedd yn llonydd, na gadael i neb arall orwedd na sefyll yn ei unfan; eithr fel drws ar ei golyn, ysgydwai y gorweddwyr yn ddibaid; ond am y gwyr traed, hi a'u lluchiai hwynt, yn nghyda'u boxes a'u llestri, draws y llawr, mor ddibris a dirybydd ag y tafla march gwyllt ei farchog anfedrus dros y clawdd, ac a'i gadawai yno; eithr hon, yn ddi-serch ddigon, pan y codai, a'i gyrai yn ol i rywle, nes yr ymgropiai gartref. Nid oedd gwiw ei herchi i beidio; ceintach y naill, na griddfanau y llall, yn nghyda lleisiau y plant, oll a gaent yr un effaith arni, sef i gynnyddu ei meddwdod; a chytunodd llawer â fy hunan cyn y boreu, mai gwell oedd gadael iddi gael ei ffordd ei hun; ymsigled nes y blino, ac felly y bu. Nid yw hi braidd wedi peidio etto.

Mawrth 1. Am ran fawr o'r dydd, buom yn rhedeg am y cyf-lyma gyda chlochdy Dewi Sant, sir Benfro; ond cyn y nos, caws-om ei flaen, o herwydd i'r gwynt ein helpu. Erbyn hyn, yr oedd llawer, yn enwedig o'r dynion, wedi ymwroli, nes, serch cwympo lawer tro, fel y baban, wedi dysgu cerdded gyda yr ochrau. Cyn-naliwyd cwrdd gweddio yn yr hwyr, ac yn fuan wed'yn trodd y gwynt yn fwy o'n plaid, yr hyn a galonogodd y cleifion yn fawr. Dim ond bara ceirch mewn blas heddyw.

— 2. Yr oeddym allan o olwg tir, a dim ond awyr lâs a dwfr gwyrdd o'n hamgylch, oddieithr ambell long a hwylient bawb eu ffordd eu hunain. Y mwyrif yn gwellhau etto yn dda.

— 3 Tywydd yn hyfryd, a'r plant bach yn chwarae hyd y llong, a'r rhieni yn chwerthin wrth weled ambell garn o honynt ar eu gilydd hyd y llawr, ac etto ofn anturio yno i ymyraeth. Hyd heddyw hebryngwyd ni gan adar ein gwlad, eithr nid dim yn mhellach; ond wedi gorchymyn ein gofal i laweroedd o adar y môr, dychwelasant.

— 4 (Sul). Am ddau o'r gloch, cawsom gwrdd Saint hyfryd a rhagorol, a phawb wrth eu bodd, oddieithr ambell un o'r rhai a wrthodasent bob cynghor i ddod ar y deck, pa rai oeddynt erbyn hyn wedi magu twymyn yn eu gwelyau, yr hyn a achosodd i ni gryn ofid a thrafferth, ynghyd a gweddiau taer, cyn eu hadferwyd. Rhybyddiwn ereill i beidio gwneyd yr un modd. Rhoddwyd llawer o gynghorion llesol a dyddorol yn y cwrdd; ac ar ol y sacrament, tystiolaethodd amryw am ddaioni Duw, &c. Cleifion yn gwella. Yn y nos dosparthwyd y Saint yn ddau gwrdd gweddi, y naill hanner yn mhob pen i'r llong. Y gwynt a'n pleidiodd yn ddymunol.

— 5. Tywydd yn hyfryd drwy'r dydd; ymlwybro i'r deck yn gysson iawn; y cerddorion yn canu gydag unarddeg o offerynau cerdd, a phawb ond rhai cleifion yn weddol gysurus.

— 6. Braidd yn annysgwyliadwy i neb o honom, bu farw ein hanwyl chwaer, gwraig i'r brawd Hugh Davies o Lyfnelfiad, yn dros 60 mlwydd oed, ac yn wael iawn ei hiechyd pan y daeth i'r llong, fel braidd y dysgwyliasai gyrhaedd dros y môr, er hyny ei dewisiad oedd dyfod gyda ei theulu. Ymddygodd cadben a swyddwyr y llong yn garedig iawn yn ngwyneb yr amgylchiad, a theimlai pawb drwy'r llong mai tŷ galar yw ein haonedd heddyw. Cadwyd cwrdd gweddi yn yr hwyr, a phawb yn well eu hiechyd; effeithiodd y farwolaeth i beri i ereill a wrthodasent godi o'u gwelyau hyd yn hyn, a'r canlyniad fu iddynt wella.

— 7. Yr hin yn hyfryd, a'r gwynt yn deg, y llong yn hwylio tua 7 milltir yr awr. Darparwyd i gyflwyno corff ein chwaer i w dyfrllyd fedd; pregethais ei phregeth angladdol am ddau o'r gloch, ar y testun, "Pa fodd y cyfodir y meirw, ac â pha ryw gorff y deuant?"—(Paul.) Atebais y cwestiwn olaf yn fyr, ond dilynwyd yr atebiad i'r cwestiwn arall yn mlaen am amryw Suliau; ac nid yw wedi ei gwbl ateb etto! Ar ol y bregeth, rhoddwyd yr arch ar astell fawr, stopwyd y llong, ac ar ol i'r Saint ganu hymn, y morwyr a godasant y pen mewnol i r astell, nes y disgynodd yr arch oddiar y pen arall i'r dyfnfor hallt, yr hwn, trwy rym y ceryg a roddiasid yn yr arch i'w suddo, a ymagorodd i lyncu ei drysor drud, ac i'w gadw yn ddiogel hyd y dydd ag y gorchymynir i'r "môr roi i fyny y meirw sydd ynddo." Mae tybiaeth anghywir iawn gan rai, ac yn peri arswyd arnynt wrth feddwl am gael eu claddu yn y mor. Meddyna rhai y byddant yn nofio ar y wyneb, ac yn ysglyfaeth i bysgod; ac hyd y nod pe felly, pa waeth hyny na phydru yn y graian oer, a bod yn ymborth i chwilanod bedd; eithr, nid yw y pysgod yn cael y rhai a gleddir yn y mor, o herwydd dyben rhoddi y pwysau gyda y corff yw, fel y suddo i lawr yn gyflym yn îs i'r eigion nag yr êl pysgod byth, ac yn îs nag y gallant fyw, ac yno y noftia mewn heli llonydd, yr hwn a'i cadwa rhag dadansoddi na phydru yn oesol; ie, yn llawer gwell cedwir hwy hyd ddydd eu cyrchiad, pan "y berwa y môr," nag y cedwid y goreu o'r Aifftiaid drwy embalmio. Yr ystyriaeth hon a ddilea y gwrthdarawiad sydd yn y meddwl i gladdu yn y môr, ac a'i gwna yn hytrach yn ddewisol. Hefyd, meddyliaf mai dyma oedd yn ngolwg yr apostol, pan y dywed y dyry y môr ei feirw allan, nid yn fyw, debygaf, ond y corff a gladdwyd ynddo, ac a gadwyd yn y dull hwn; nac i fod byth yn fyw; canys "y corff a heuir, nid hwnw a fydd," serch ei hau yn y môr neu dir, ond corff anllygredig a hunanieithir â'r ysbryd a feddai gorff o'r blaen. Wedi i'r môr gau ei safn am ei damaid, a'n llong fach sefyll i ni allu syllu ar yr olygfa fawreddig hon am ychydig fynydau, llanwodd ei hwyliau ag awelon, a charlamai dros y tònau fel pe na buasai dim wedi dygwydd. Parhaodd y gwynt o'n plaid, a phob peth yn gysurus, a'r holl gleifion wedi gwella, a phawb yn bwyta ei allowance drwy yr wythnos hon. Cadwyd cwrdd gweddi a chynghori bob nos.

— 11 (Sul). Y gwynt yn ysgafn ac i'n herbyn; y môr yn dawel, a phob un wedi ymlanhau erbyn y cwrdd, yr hwn a ddech-

renodd am ddau o'r gloch, ac a barhaodd hyd bump o'r gloch; buom am dros ddwy awr yn ceisio ateb y cwestiwn blaenorol, sef, "Pa fodd y cyfodir y meirw?" a gohiriwyd ef hyd y cwrdd nesaf. Ymddangosai pawb wrth eu bodd, ac yn gorfoleddu yn y ddysgeidiaeth. Cyn diwedd y cwrdd trodd y gwynt yn nerthol o'n plaid, yn ol ein gweddiau, yr hwn gan mwyaf a barhaodd o'n plaid drwy yr wythnos; weithiau chwythai ni dros 10 milltir yn yr awr. Teimlem y gwynt a'r hinsawdd, erbyn hyn, yn gwresogi yn raddol, gan ein bod wedi hwylio o hyd i'r de-orllewin; dechreuai amryw gwyno fod eu dilladau gwlanen yn rhy drwm, ac nid hir y buont yn oddefol. Gwell pe buasai gan bawb ychwaneg o ddillad ysgafn. Ni chawsom nemawr wlaw, oddieithr ychydig gawodydd; ac nid gwlawio yr oedd pryd hyny, ond tywallt dwfr i lawr o'r cymylau. Gwelsom, weithiau, amryw wahanol fathau o bysgod, rhai mawrion iawn, ereill llai, ac yn neidio o'r dwfr. Helpai hyn y diogwyr i ddyfod i'r deck, yr hyn a'u gwellhäai bob anadliad.

— 16. Bu y gwynt yn groes iawn i ni yn y prydnawn. Galwyd cwrdd gweddi am saith, i weddio am wynt teg. Ar ol y cwrdd, dywedais wrth rai oedd ar fy mhwys, y teimlwn awydd arnaf fyned ar y deck, a pheidio dychwelyd hyd nes y rhoddai ein Tad wynt teg i ni. Tra yn myned, a'm troed wedi sengu ar rîs isaf yr ysgol, cyfarchodd rhai gerllaw fyfi am y naill beth a'r llall, a gofynodd un beth a ewyllysiwn fwyaf? Atebais, mai clywed y mate ar y deck yn bloeddio, "*Haul in the weather braces*;"* a chyn i mi syflyd fy nhroed o'r man lle yr oedd, clywwn i, a'r lleill a'm clywsent yn dymuno hyny, y mate uwch ein penau yn bloeddio yn uchel, "*Haul in the weather braces*," ïe, air am air megys y dywedais; ac wele wynt teg yn nerthol chwythu o'n plaid, yr hwn mewn ychydig ddyddiau a'n gyrodd tua mil o filltiroedd tuag adref, sef tua Seion. Mawr y diolchem i'n Duw am dano.

— 17 (Sul). Tywydd yn hyfryd, a phawb yn gysurus. Prydnawn, cawsom gwrdd Saint rhagorol; ychwaneg am "Pa fodd y cyfodir y meirw?" Cwrdd yn yr hwyr. Gwynt teg, a hin mor hyfryd drwy yr wythnos braidd ag sydd yn Nghymru yn mis Mehefin. Ambell *squall* a chwmwl yn tori i'n diwallu â dwfr gwlaw i olchi. Hyfryd yw gweled y plant yn chwarae hyd y deck, ac yn difyru eu rhieni; rhai yn canu yma, ereill yn chwedleua, neu yn darllen draw; rhai yn cerdded fraich yn mraich, tra ereill yn darparu bwydydd o gynnifer fathau braidd ag a geir mewn unrhyw cookshop. Gwnai y cerddorion eu goreu i harddu y drych, a'r delyn hithau â'i lleisiau mwyn yn unig yr hwyr a'n difyrai wrth ganu ffarwel i frenin y dydd, pan y gostyngai ei ben coch yn yr eigion gorllewinol. I oleuo yr olygfa yn ei le, deffroai Phebus fwyn o'i chwsg, fel pe cenfigenai wrtho. Nid rhyfedd ddarfod i olygfeydd llai hynod na hyn gynhyrfu sodlau Dafydd gynt, nes yn y deml iddo ddiosg ei wisg—i ba beth? Ust! a gawn ni ateb? Beth dal celu, oni wnaeth ef hyny *i ddawnsio*! Do, do; ac ni chawsai nemawr o'n plith ni, ond ambell sectariad

* Gorchymyn i dynu yn y rhaffau a osodant yr hwyliau ar draws y llong ac yn dynodi gwynt teg yn ddieithriad.

sychlyd, a'r na fuasai cyn hawdded ganddynt ei efelychu ef yn hyn, a beio arno. O'r hyn lleiaf, anhawdd gwadu a'r nad felly y bu yma ar brydiau, heb achosi storom ychwaith. "Siop y cwmpeini" yn agored i ranu allan, heb lyfrau nac arian, ddigonedd o naill ai ffa gwynion, rice, blawd gwenith, blawd ceirch, cig moch, neu rywbeth arall, a phawb eu gwala o hono. Rhai yn cwyno rhag anwyd, trwy wlychu yn y gwlaw.

— 25 (Sul). Awelon ysgafn o wynt ar brydiau; dro arall yr olygfa o'n hamgylch "megys môr tawel o wydr;" ac nid yn unig yr elfenau, ond ein llong a'i phlant oll, yn cadw y Sabboth santaidd hwn yn orphwysfa lonydd; eithr syllai yr haul yn rhy graff ar rai, hyd nes da oedd cael cilio o'i wyddfod i rywle. Cwrdd Saint prydnawn, a darlith ar "Pa fodd y cyfodir y meirw." Pregeth Saesneg ar y deck yn yr hwyr, a'r morwyr oll braidd yn canmawl yr athrawiaeth. Cododd y gwynt yn nerthol o'n plaid yn y nos. Nemawr neillduol olygfa yr wythnos hon a'r a nodwyd, oddieithr ambell groes awel, yr hyn a gyfnewidiai braidd yn gysson ar ganol neu ddiwedd ein cwrdd gweddi, yr hyn a gynnelid bob nos; neu ambell ymweliad pysgod i'n difyru, neu long yma a thraw o bell, a lonent yr olygfa unig. Y gelyn diafol, yntau hefyd, a gyd honai ei hawl â Neptune (duw y môr) i gydforio â ni, er nad mor felys ei gwmpeini; etto, gwaith anhawdd oedd ei gael dros y bwrdd, o herwydd ei gyfrwysdra; ac nid anfynych, mewn caledi, y troai ei hun yn angel goleuni, ac felly llechai yn llogell ambell swyddwr. O bawb a adawer ar ol yn Babilon, bydded hwn yr olaf! Morwr gwael, terfysgwr yw; ac arweinydd gwaeth nag Ahitophel. Nid i'r moch—nid i'r môr, ond i rai o'r Babiloniaid, y diangai weithiau; a'r tro nesaf y croesaf fi y môr â llwyth o Saint tua Seion, caiff y ddau rywogaeth arall aros adref! Teimlid lles mawr trwy yfed ac ymdrochi yn nwfr y mor yn y boreu. Gwnaed pawb felly â'u plant, goreu po amlaf. Gofaled pawb i beidio hongian dim i rwystro i'r awyr fyned drwy y llong; hefyd, edryched pawb na byddont eu hunain, na'u plant, yn rhwym eu corff,—cymmerer meddyginiaeth. O herwydd yr esgeulusdod hwn, dyoddefodd amryw nes myned braidd yn anfeddyginiaethol. Na fwytaer cymmaint o fwyd cryf ychwaith, canys nid yw y segurfyd hwn yn ei drenlio. Yn anad pob peth gwerthfawr arall a ddyger i'r mor, nac anghofier dod â llawnder mawr o *amynedd;* bydd treuliad mawr ar y stor hon, gofaler na ddiffygio. Gwerthfawrocach hefyd nag aur lawer, yw gronyn bach o wir ffydd ar y mor, canys pryna hono wynt teg a phob peth anghenrheidiol. Ond er pob peth fu, ni chlywais neb yn edifarhau am gychwyn, ond yn awyddus am gyrhaedd i Seion. Pleser mawr oedd genyf glywed pawb braidd, ol a blaen, yn canmawl daioni Duw tuag atom,—y tywydd teg, yr awelon hyfryd, yr ymborth rhagorol, a'r ffyniant cyffredinol, a gaem yn well na'n dysgwyliad cyn cychwyn. Ac yn wir, nid difyrwch gwael oedd gweled y cogyddesau oddeutu y tân yn gwneyd eu puddings, eu pancakes, a'u fries, yn bentyrau, ac yn gwahodd y naill y llall i yfed tê gyda eu gilydd; ac yn yr hwyr, "codent i fyny" yn

llawen, fel y rhai hyny gynt—"i ddawnsio." Fel hyn aeth a daeth aml ddiwrnod hyfryd ar y cefnfor. Pwy a'u beia?

Ebrill 1 (Sul). Y Sabboth hwn etto, cytunai holl natur â ni etto i ymlonyddu i syllu ar ardderchogrwydd creadigaeth ein Duw. Dwy long ereill a'n hefelychai, er yn mhell. Cwrdd Saint hyfryd iawn; darlith, am ddwy awr, ar "Pa fodd y cyfodir y meirw?" Amryw rai yn gadael heibio eu holl ddillad gwlanen, fel fy hunan, ac yn cael anwyd. Gofaler rhag hyn; etto, hyfryd yw dillad haf yn awr, ond gwell ymgospi meddai'm dyoddefiadau i; canys yn yr hinsawdd hyn, yn ddisymmwth rhwyga y cymylau dan bwysau eu beichiau dyfrog; yn enwedig na adawer dillad gwlyb am danoch. Ganol dydd heddyw, yr oedd ein hamser ni yma bedair awr ar ol amser Llundain; sef, pan yn ddeuddeg o'r gloch neu ganol y dydd yma, yr oedd yn bedwar o'r gloch prydnawn yn Llundain, yr hyn a brofai ein bod ni 60 o raddau i'r gorllewin o Lundain, a chenym 30 gradd. 9 mynyd yn orllewinol i'w rhedeg etto cyn cyrhaedd New Orleans. Syllais ar yr haul heddyw etto drwy y sextant, a chefais ein lledred yn 23 gradd 54 mynyd yn ogleddol, neu o fewn 14 o filltiroedd i'r tropics, pa le yn nghanol yr haf, y buasai yr haul uwch ein penau; eithr, gan ei fod yn y deau yn awr, ac awelon hyfryd yn tymheru yr hin, ni theimlem wres annyoddefol. Ein pellder o New Orleans heddyw yw tua 2000 o filltiroedd. Ein pellder oddiwrth y tir a ddysgwyliwn weled ar ein taith, sef "Hole in the Wall," un o ynysoedd y Bahamas, sydd o naw cant i fil o filltiroedd. Ein pellder deheuol o Lynlleifiad yw 1806 o filltiroedd.

— 2. Cawsom amryw stormydd a gwlawogydd, a chroes-wyntoedd geirwon o amryw fanau, a fwgythiai lyncu ein cragen fach i eigion y crochan hallt; er hyny oll, drwy nodded ein Duw, a medrusrwydd ein cadben a'i forwyr, dringai ein llong i'r làn o dòn i dòn, fel yr ehedai y wenol drwy yr awel deneu. Pan ganfu y mor a'i uthr, egr dónau, na throai ein llestr fach yn ol, er ei siglo hi a'r oll oedd ynddi, fel y gwna y corwynt â nyth y fran ar frig y dderwen, ac na allai siglo un o'r cywion bach o honi—newidiodd ei wedd, ac a wenodd yn fwyn; yr haul, yr hwn gynt a wisgodd sachlen flew yn ddigofus ei hylldrem, o hug i hug a ddiosgodd ei wisg, ac a chwarddodd am ben y gyflafan, gan addaw yn deg wrth ostwng ei ben mewn wybr goch, y caem noson ffein i gysgu heno;—am yr hyn, diolchai pawb, a gwnaent yn fawr o honi. Efallai mai anhygoel gan yr anwybodus fydd y dywediad nesaf, ond y mae yn ddigon gwir, serch hyny, ein bod ni braidd bob dydd bellach yn gweled pysgod yn ehedeg! weithiau gwelem ugeiniau o honynt gyda eu gilydd. Ehedant weithiau gryn filltir neu ychwaneg, ac yna gwlychant eu hesgyll yn mrig y dòn, ac ymaith â hwy eilwaith. Erlidir hwy gan bysgod ereill, pa rai a neidiant o'r dwfr ar eu hol amryw droedfeddi o'r dwfr; da i'r gwanaf pryd hyn fod y Creawdwr wedi trefnu iddo adenydd i'w waredu. Nid yw y pysgod hyn yn ehedeg yn uchel iawn, er yn uwch pan fo y gwynt yn gryf na phan fydd yn dawel. Ar brydiau ereill, yn y cylchoedd hyn, gwelais hwynt yn ehedeg yn erbyn

hwyliau y llong, ac yn cwympo ar y deck; a chan na allant godi ond o'r dwfr, daliem hwynt. Nid ydynt gymmaint â mackerel yn gyffredin. Eu hadenydd ydynt, nid o blu, ond math o groen dysclaer a theneu iawn; caua yn y dwfr i ateb yr un dyben ag esgyll; eu hyd ydynt o 6 hyd 10 modfedd. Ni allant ehedeg yn hwy nag y parha eu hadenydd yn wlybion, ac nid ydynt i'w gweled ond mewn hinsawdd twymn.

Yn awr y mae Mrs. Williams, gynt o Ynysybont, wedi bod yn glaf o dwymyn am amryw ddyddiau, yn gwellhau yn raddol. Jane Morgans o Gaerdyf, yr hon oedd wedi dyoddef doluriau poenus ar ei choesau ar brydiau er ys naw mlynedd, ac wedi cael ei hystyried yn hollol anfeddyginiaethol gan feddygon, yn gwaethygu; y mae hi wedi digaloni yn arferyd yr ordinhad eglwysig, a'i ffydd ynddi wedi diffygio. Yr ydym, er pan y daethom i dywydd twym, bob dosparth yn ei ddydd ar gylch, yn taenu eu gwelyau, a'u dillad gwelyau, &c., yn yr haul ar y deck, yr hyn sydd yn iechyd mawr i bawb. Gwnaed pawb felly, goreu po fwyaf. Ein cadben, yn dirion, a roes i ni fath o wlybwr i'w daenellu ar hyd ein gorwedd-leoedd, &c., yr hwn a bura yr awyr yn rhyfeddol, a'r hwn a ddefnyddiem yn aml. Mae genym amryw hen bobl yn y llong, ac y maent oll yn gwella, fel y deuant i'r deck bob dydd hyfryd. Un hen wr, yn agos i gant oed, a ddywed yn siriol ei fod yn fwy hapus nag erioed,—fod llawer o'r sectariaid yn Nghymru, ac hyd y nod yn Llynlleifiad, bu y Parch. H. Rees a pheirch. ereill, yn ceisio ei ddigaloni i beidio dyfod, ac yn prophwydo na chyrhaeddai dros y mor, a llawer o bethau ereill; "ond yr wyf fi," ebe efe, "yn penderfynu, drwy nerth Duw, eu profi hwy oll yn gau-brophwydi." Yr oedd efe wedi colli ei wallt, oddieithr ychydig o wallt gwyn fel yr eira; ond erbyn hyn y mae ganddo gnwd toreithiog o wallt newydd fel gwallt plentyn, a dywedai ei fod yn teimlo yn ieuengach o hyd! Gwynt yn deg a hyfryd. Dydd Sadwrn, y 7fed, yr oeddwn i wedi bod i fyny drwy y nos, ac yn edrych am dir hyd 4 o'r gloch y boreu; ac nid oeddwn wedi braidd cysgu cyn i'r fonllef fawr a'i dylanwadau cyffrous ar bawb ereill, sef, 'Land a-head' (tir o'n blaen), fy neffro. Mawr y llawenydd a barodd hyn i'r holl fudolion; nid oedd son am, na sylw o ddim arall am yspaid, ond y tir. Erbyn codiad haul, yr oeddym yn hwylio yn hyfryd i'r deau, ar hyd glanau ynys Abaco, un o'r Bahamas. Ynys lled anial yw hon, ac a boblogir gan bysgotwyr gan mwyaf, neu bobl yn tori coed tanwydd i'w cludo i barthau ereill i'w gwerthu Ymlidia daeargrynfaau bawb oddi yma weithiau, a gwna alanastra mawr. Dim dymunol iawn yr olwg arni. Naw o'r gloch y boreu, troisom y llong i'r gorllewin i amgylchu y cwr deheuol i'r ynys, oddifewn tair milltir neu lai i'r tir. Ar y pwynt deheuol hwn y mae goleudy ar graig, a thŷ annedd ar ei bwys, yn yr hwn y triga ceidwaid y goleu-dy. Y mae tair o longau ereill yn cyd-hwylio â ni heibio iddo, eithr yn dala yn fwy deheuol tua Cuba. Erbyn canol dydd, gadawsom yr ynys hon o'r golwg ar ein hol, ac yr oedd amryw ynysoedd a chreigiau ereill ar y deau i ni, llai na deng milltir

oddi wrthym. Dylaswn hysbysu i ystyriaeth y lleill etto a ddaw ffordd hyn, gan y deuant yn agos i'r goleu-dy a nodwyd, mai ei enw yw Hole in the Wall, ac fel y cofio y sawl a syllo, llygaid pwy fu yn edrych arno o'u blaen. Galwaf sylw at yr ystyr o'r gair, neu y tarddiad o hono; sef, Cewch weled twll mawr drwy greigiau uchel ar y twyn creigog lle y mae y goleu dy. Ymddangosai fel pont neu *arch* fawr o waith celfyddydol, eithr naill ai naturiaeth neu ymfrwydriad yr elfenau a'i gwnaeth. Yr oedd gynt bont arall hynotach, yn cyrhaedd o ben un graig i'r graig gron arall ag sydd yn awr yn unig, a thua 300 o latheni i'r mor oddiwrthi. Lle peryglaf i'w forio o'r holl fyd yr ystyrir y cylchoedd hyn; o herwydd amgylchynir ni am amryw gannoedd o filltiroedd, gan greigiau, rhai arwynebol, rhai tanwynebol, ynysoedd, a thywodydd. Gwelwn amryw longau bach yn pysgota, ac amryw longau bach ereill a elwir yn "wreckers," sef y rhai sydd yn gwybod am y moroedd, ydynt yn hwylio oddi amgylch yn barhaus, gan ymddibynu am fywioliaeth ar anffodau llongau ereill. Pan y bo llongau wedi colli eu ffordd, arweinia y rhai hyn hwynt i'r ffordd iawn, ac achubant lawer o fywydau. Pe bai hyn yr oll a wnelant, da fyddai eu gwaith; eithr cyhuddir hwy o hudo llongau drwy gau-arwyddion o'u ffordd, er mwyn cael miloedd o ddolars am eu harwain allan o berygl yn ol. Rhaid fod llaweroedd o longau yn colli y ffordd hyn, cyn y cynnelid cynnifer o honynt oddi amgylch i ni yn awr; ond nid oes anghen am eu cynnorthwy, a gobeithiaf na bydd ychwaith. Machlud haul, cafwyd gwaelod o fewn ugain gwrhyd o ddwfr. Moriwyd yn hwyllog a gofalus drwy y nos, a dygodd ein Harweinydd ni yn ddiogel i weled goleu dydd Sul etto, a Sul y Pasc oedd hwnw; ac er na feddai nemawr rhyw lawer o ddillad newydd i'w gwisgo heddyw, gwelem lawer o bethau newydd a rhyfedd o'n hamgylch. Gwelem oleudy ar ynys arall, ac amryw Ffrancod yn byw ar y lân, wedi adeiladu eu tai, neu yn hytrach eu cabanod tywyrch a disyml yr olwg, ar lân y mor. Hwyliwn yn awr i'r deau ar hyd ochr y Grand Bahama Bank. Gwynt hyfryd o'r de ddwyrain; llong yn mynyd chwech milltir yn yr awr drwy'r dwfr, heblaw fod y dwfr yn rhedeg gyda ni o dair i bedair milltir yr awr. Nid yw y current dehenol hwn onid llai na milltir o led, oddi allan, neu i'r gogledd i'r hwn mae'r Gulf Stream" yn rhedeg, yn hollol groes i'r arllwysiad hwn. Yma cawn waelod mewn dwfr gwyrdd, mewn o bump i ugain gwrhyd, a'r dwfr yn oer; pan ar y llaw ddeheu i ni, ychydig latheni, y mae lliw y dwfr yn ddu, ei rediad yn hollol groes, ac yn dwymnach o lawer. Gwelem ar lanau y creigiau weddillion o long ddrylliadau. Amryw "wreckers" yn cyd hwylio â ni. Pawb wrth eu bodd yn syllu ar y tir, ac yn neillduol wrth ein bodd ni yn ei adael mor gyflym ar ein hol, ac yn tynu tua phen ein mordaith. Nid yw ynys Cuba neppell oddiwrthym i'r deau, ac y mae prophwydoliaeth ddwl a ffiaidd "Seren Gomer,' *

* A gyfeiliornid pe baerid mai y Parch. H. W. Jones, cyhoeddwy y Seren, yw y gau-brophwyd uchod, fu yn ysgrifenu dan yr enw "Anti Humbug," yn Seren Gomer, Hyd., 1848?—J. D.

y caffai y Saint eu gwerthu yn gaethion yma, yn destun gwawd rhwng pob dau hyd y deck braidd. Mae y gohebydd hwnw wedi anfarwoli ei ffolineb â chwaeth aflan, a dwyn Cuba i fwy o sylw na dim arall. Ateba ddyben yn awr i adgoffa yn meddyliau y mudolion, y celwyddau a'r camgyhuddiadau a draethwyd ac a gyhoeddwyd arnynt hwy a'u crefydd anwyl, gan eu cydgenedl, nes y datoda eu serch o gwlwm bwy gilydd, hyd y nod oddiwrth wlad eu genedigaeth; ac yn lle meddwl am droi yn ol, symbyla hwy i droi eu gwynebau, nid i'r dwyrain, ond at fachlud haul, am ryddid i addoli Duw, ac am yr iawnderau hyny ag yr amddifadwyd hwynt o honynt gan "Gristionogion selog" eu gwlad eu hun! Iê, gweddi barhaus pawb drwy y llong yw, "Chwyth, ddwyreinwynt, chwyth ni'n chwyrn i'r eigion gorllewinol."

O, hyfryd myfyrio ar yr olygfa hon! Gobaith a lanwa fynwes pawb, fel hwylia y llong gan bwysau yr hyfryd awel. Mawr y diolchant oll i'w Ceidwad ar y moroedd. Yn Seion, serch hyny, y "maen tynfa" sydd; oddi yno sugnant eu holl gysuron. Eithr ni thal i ni ollwng ein meddyliau mwy, onide rhy faith fydd i'ch colofnau. Af at hanes mwy, a meddylied pob un drosto ei hun; efallai mai hyny fuasai y goreu o'r dechreu.

Anghofiais ddweyd ddarfod i ni gael cwrdd Saint nos Iau ddiweddaf, megys y cawsom rai prydiau o'r blaen, ond y tro hwn oedd y cyntaf i ymarferyd y doniau, a mawr y cynhwrf a wnaeth hyny ol a blaen y llong, yn mhlith y Babiloniaid! Heidient, a swyddwyr y llong oll gyda hwy, at fynedfan ein lle, a chlustfeinient mewn syndod. Synem yn fawr beth a achosodd hyn; ond deallasom fod "Achan" yn ein plith—fod dau neu dri o'r Saint, y rhai oeddynt dan droseddau, yno gyda hwy, ac yn cyfieithu iddynt, ac yn ddatguddio iddynt gredu yn ddrwg am danom, fel ag y bu swyddwyr y llong, a'r cadben hefyd, yn chwerwach withym wed'yn nag erioed o'r blaen, a gwaith mawr a gefais yn ei dawelu. Gorfododd eu cynnalaeth hwy i ni beidio ymarferyd y doniau ar ganol y cwrdd, er ein galar, eithr nid cyn i ni gael cysur mawr drwyddynt, a deall rhyw bethau am danoch chwithau yna, &c. Hysbyswyd ni fod plaid o'r rhai a siomwyd yn eu hamcan tuag ataf fi wrth gychwyn, yn cynllwynio i ddial ar fy nghydswyddwyr anwyl sydd yna ar fy ol; eithr na lwyddant. O, Arglwydd nef, cadw hwynt. Hefyd, fod llawer o'r Babiloniaid yn gweddio am ein hafllwyddiant, a'r Saint am ein ffyniant. Prydnawn; gwynt yn deg. Cwrdd Saint rhagorol; ac yr oeddym wedi ymneillduo i'r pen ol i'r llong, lle ni allai y Babiloniaid, na'r bradwyr oedd yn ein plith, ein rhwystro i fwynhau y doniau ysbrydol, pa rai a'n cysurasant yn fawr. Ordeiniwyd Daniel Daniel a Benjamin Francis yn henuriaid. Rhoddwyd llawer o gynghorion o barthed i iechyd a gwisgo, a'r angheurheidrwydd sydd am i bob un ofalu am sefyllfa eu cylla, yr hyn a barodd i bawb braidd ddyfod i ymofyn meddyginiaeth, gan fod yr olew wedi darfod. Mae hyn yn anghenrheidiol er rhagflaenu y dolur rhydd. Gofaled pawb am hyn.

— 9. Dygodd ein Duw ni yn ddiogel drwy beryglon y noson

hon hefyd, a gwenodd arnom trwy barhau y gwynt o'n plaid. Am 8 o'r gloch, daeth agerfad heibio i ni, ar ei ffordd o Havana tua New York, ac hefyd gwelsom dair o longau rhyfel Prydeinig. Prydnawn, gwelsom ororau Florida, cyfandir America. Yr oedd y tir yn isel a thywodlyd, ychydig goed yma a thraw; ac, ond barnu wrth y mwg a ymddyrchafai yn golofnau o'r naill fan a'r llall i'r cymylau, y mae yma hefyd ryw fath o drigolion yn bywiolaethu. Hwyliasom ar hyd y goror hwn hyd y nos; gwelsom ddau oleudy,—un yno, a'r llall ar swpyn o ynysoedd bychain a chreigog, pa rai a gyfenwir y Fortugas. Wedi amgylchu y rhai hyn, ar doriad y dydd dranoeth, newidiasom ein cwrs i ogledd-orllewin; ac yr oeddym yma yn gadael y Gulf Stream o'n hol, ac heb braidd 500 o filltiroedd i gyrhaedd New Orleans. Y "N. E. trade winds," yr hwn a'n cariasai yn gysson a chyflym am yn agos i'r pythefnos diweddaf, yn deg yma etto. Ychwaneg o ddwfr yn cael ei ranu allan tuag at olchi, o herwydd fod genym ddigonedd ar y bwrdd fuasai i barhau am fis etto. Ac ni allwn gyffelybu yr olygfa ddiwyd ar y chwiorydd oddiamgylch y deck yn golchi, ddim yn fwy, nag i'r golygfeydd a welais wrth ddyfroedd poethion y ffwrneisiau haiarn yn Merthyr, ar ddydd golchi! Golchid y deck isaf, a than y gwelyau, â "chloride of lime," er puro yr awyr. Mrs. Williams yn glafach. Pawb yn darparu eu cistau, &c., ac i fod yn barod i adael y llong cyn hir. Cynnygiwyd ychwaneg o luniaeth o "siop y cwmpeini"; eithr yr oedd y fath lawnder gan bawb, fel na ddaethant i'w ymofyn; dywedent fod eu ffetanau a'u llestri oll yn llawnion, fel na feddent le i gynnal ychwaneg; a dyweda llawer na fu ganddynt y fath amrywiaethau na llawnder o fwydydd o'r blaen yn eu hoes. A dywedaf finnau y dylai y neb na foddlonid ar yr ymborth hwn, gael ei gau yn y ffwrn am yspaid, fel lap-dog y foneddiges hono!

Prydnawn Mawrth; gwynt yn ysgafn, a'r mor yn dawel; yr hinsawdd yn anghysurus o dwymn. Gwelsom amryw longau, fel pe deuent allan o New Orleans. Mrs. Williams, o Ynysybont, ger Tregaron, yn gwaelu yn gyflym, ac argoelion na byddai byw yn hir. Dywedodd wrth ei meibion a minnau nad oedd nemawr ddewis ganddi, pa un ai marw yn awr, ai byw yn hwy a gaffai. "Mae dymuniad mawr ynof," ebe hi, "am gyrhaedd Seion; ac ofnaf, pe bawn farw ar y mor, y digalonai hyny ereill, yn eu hen ddyddiau, i anturio dros y cefnfor ar fy ol; canys boddlawn wyf i farw, yn hytrach na bod yn rhwystr i achos Duw: o'r ochr arall," ebe hi, "dymunaf fyned i orphwys yn awr yn nghol fy Iesu, os da yn ei olwg." Dywedodd mai y fraint fwyaf a gafodd erioed, oedd cael dod yn aelod o wir eglwys Mab Duw—nad oedd un dychryn yn ei mynwes o barthed i'r byd arall, ac fod ei chrefydd yn awr yn profi ei grym yn fwy nag erioed. Gofynwyd iddi, a oedd hi yn edifarhau o herwydd iddi ymadael â'r Methodistiaid (gyda pha rai y bu yn aelod parchus am 55 o flynyddau)? Atebodd, fod yn well ganddi yn awr na'r byd i gyd, ei bod wedi cael byw i glywed pregethiad yr efengyl gan y Saint; a chynghorai ei meibion yn ddwys i barhau yn ffyddlawn hyd angeu, fel y caffont,

gyda hithau, adgyfodiad gwell. Ymddibynodd, drwy ei nychdod, ar ordinhadau yr eglwys, ac ni chlywbuwyd grwgnach o'i geneu. Parhaodd yn ei chof drwy y nos; ac am chwarter wedi pedwar boreu dranoeth, ymadawodd ei hysbryd mewn tangnefedd, gan adael gwên ar ei geneu. Cafodd bob amgeledd, cymhorth, a thiriondeb gan bawb, ac yn enwedigol gan ei meibion ffyddlawn, y rhai a'i parchai fel eu heneidiau eu hunain; ac ni flinasant braidd ddydd a nos yn ei gweini, ei chysuro, a'i hamgeleddu. Yr oedd hi wedi cyrhaedd yn mhell dros bedwar ugain mlwydd o oedran

Dydd Iau, Ebrill 12, wedi gwneyd pob darpariadau angladdol a elid, pregethwyd ei phregeth angladdol; ac wedi hyny, cyflwynwyd hi i'w gwely gwlybaidd, yn ngwydd y canoedd mudolion a edrychent yn syml a threfnus ar yr olygfa sobr, a'r cantorion yn canu. Ac wedi hyny, ymlwybrodd ein hannedd sigledig yn mlaen o'r olygfa alarus; yn unig ar y cefnfor mawr ymrodiai yn araf, a'r cuddug du oedd ei galar wisg. Yr haulwen hefyd, er maint ei rym a'i ddewrder, eisoes a ymdrwsiasai yn ei alarwisg gymylawg yntau, yn y gorllewin pell, pan ganfuodd un o famau yn Israel yn cwympo ar ei ffordd i Seion. Oll! oll i gyd yn brudd eu gwedd. Y noson hono a basiodd; a dim ond y shark, bysgodyn creulawn, a'i ddannedd hir a fforchog, yn awr a efelycha y ci ffyddlawn wrth feddrod ei feistr, a arosodd yno ei hunan yn gofadail o'i gorweddle hi. Er yn nghanol y pysg o'r eigion chwerw, hyd ei chyfodiad, heddwch fo i'w gweddillion, a chlodfawr fo ei henw. Boreu dranoeth, ar doriad y wawr, croesaw, ddwyreinwynt hoff; tosturiodd wrth ein cyflwr yn eiddigeddus, chwythodd ymaith ei galarwisg—ein galar, o'i swithni a ymysgydwodd—megys Phœnix o'r lludw, newidiodd ei gwedd o'i phen i'w thraed —mewn gair, fel Dafydd gynt ar ol marw ei faban, ein llong, yn ei llawn wisg, fel y march i'r frwydr, a ymruthrai dros y tònau gwyllt,—ymgamplai i ddifyru ei galarwyr â'r gobaith o weled eu porthladd y fory. Er hyny, cyn i'r fory ddód, yn fradwrus troes i ni, a chwythodd ereill tua'r dwyreinfyd. Yr haul yntau, erbyn hyn, er ei gydymdeimlad galarus neithiwr, a droes yn boenydiwr; o'i gawell boeth yn gryf poenydia bawb â'i belydrau tanbaid.

Gwener.—Gwelwyd amryw longau. Gwelwyd hefyd y rhyfeddod mwyaf a welodd rhai yn eu hoes. Er gweled angladd ddoe yn ei ddwysaf olygfa, heddyw gwelir priodas hynod a mawreddig, sef y "dyfroedd sydd dan y ffurfafen, a'r dyfroedd uwch y ffurfafen," yn ymgyssylltu drwy *water spouts* cedyrn a nerthol. Yr elfenau, yn eu hymffrost, a geisiant, drwy gydseiniad, i ddifodi pob peth yn ein ffurfafen ni, a chymmysgu yr oll yn ddwfr-fyd. Yn yr ymdrech hyn, rhuant yn uthr; troellant erw neu fwy o'r berw hallt, fel pe bai yn y crochan; yn eigion ei grochan y pysg a welir blithdraphlith yn ehedeg o'u hanfodd o'u helfen i'r awyr. Y gerwyn fawr ddigofus, yn ei grombil hunan-gynhyrfiol, a genedla gorwynt nerthol, yr hwn o blaid ei elfen a chwyth ei wrthwynebydd fel peiswyn hyd wyneb y dyfroedd. Er hyny, brwydro a wna, er priodas gynneu, a chyndyna am y feistrolaeth! Estyna

ei ben i'r wybr yn fawreddig a hyf, fel clogwyn Gwyddfa ein gwlad; oddiyno dysgwylia ei gymhorth;—nid yn ofer chwaith, ond *anon*, dealla ei gymhorth fry, a gwelaf eu cerbydau yn brysio i'w gyfarfod! Y cymylau, er eu trwch, hollti a wnant; o'r darnau gweua wddf hir, braff, troellog. Yn gyflym i lawr dynesu a wna; prancia y rhan isaf i'w gyfarfod! 'Nawr undeb a wneir; cymmysgu a wna—priodas hardd sydd rhwng y gwlybwr hallt mawr a'i elfen sydd fry! Syndod y fath gofleidio! ie, cymmysgu a chusanu sydd, nes chwysu yr holl heli o hono! Yr elfen hon yn wir a droes mewn priodas gynt; yr elfenau yn awr, drwy gioewi yr hallt, a ffugiant wyrth eu Deddf-roddwr! Am ennyd meddylid mai curo wnai y dwfr, a llyncu pob peth i'w ferw. Eithr mewn pryd, fel pan foddwyd ein byd, trugaredd o'r nef sydd yn gwenu; "bwa y nef" yn insel cyfammod i Noah a roed—hwn a adfywiodd ffydd yr edrychwyr. Ar hyn, "o'i ddwrn" gollyngodd Ef wynt i helpu y corwynt gwan isod; i'r ymgyrch aruthrol ymuno a wnant; o'u blaen ysgubant y water-spouts certh yn yfflon drachefn i'w lleoedd. Ac, er ceisio, dro ar ol tro, o'u dyfrllyd fedd ni chodant eu pen ddim uwch na brig eu tònau.

Nid o'n hamgylch elfenau yn unig, heddyw, yn cyffro y sydd, ond nwydau mudolion; rhai hefyd, wrth arch tywysog yr awyr, sydd yn berwi. Ei fyddin fradwrus yn deilwriaid a dront; eu gwaith yw gwneyd mwgwd o'r caddug i amdoi penau eu hudolion; gofidus yw dweyd fod llwyddiant o'u plaid; eu capiau mor es mwyth yn ffitio y sydd, nes ofnaf eu hoffir gan rai hyd eu dystryw. Nid byddinoedd ar dir yn unig a fedd certh frenin Babilon, ond deallwn erbyn hyn, ei lyngesau hefyd sydd yn chwifio eu baneri ar holl foroedd. Yn chwilfriw yr eled ei deyrnas ar frys; ar fôr ac ar dir ei ddeiliaid yn fradwyr iddo fyddo yn troi; ei fawrhydi, gan forfil, O na chai ei lyncu; i'r eigion aed hwnw, a chlo ar ei geg—yr allwedd genyf finnau yn cadw!

Sadwrn, y 14eg. Gwynt yn groes. Adar y tir yn ehedeg i'r llong wedi blino, a'r plant yn eu dala a'u dofi. Edrych allan am dir yn fusi.

Sul, y 15fed. Gwynt yn lled groes, ac yn chwythu yn arw; llawer yn hanner clwyfus, rhwng hiraeth am y tir a chlefyd y mor. Pasiwyd yn y cynghor i esgymuno William, mab B. Jones, Aberdâr, a'i wraig; ereill o'r teulu nemawr gwell: achosasant i'r Saint lawer o ofid, drwy eu camgyhuddo wrth y cadben, a gwarthruddo ein crefydd anwyl, &c. Mae pob gobaith yr edifarha Eben. Thomas. Gofid mawr drwy gyfrinachu gormod â phobl y llong, ol a blaen. Llwyddodd un o honynt, er ein gwaethaf, i benffoli a dyrysu morwyn un a fu mor dirion â thalu ei chost o Babilon. Gofalaf fi yn well tro nesaf, na chaiff pobl haelionus eu twyllo gan grotesau yn dod i garu, yn lle i wasanaethu. Cadwyd cwrdd gweddi am ddau ac am chwech. Y môr yn berwi yn erwin drwy y nos.

Llun, yr 16eg. Am wyth o'r gloch y boreu, aethym i ben blaen y llong, a gwelwn golofn o fwg o hirbell, ac yn dyrchafu i'r awyr. Yn fuan deallasom mai agerfad o New Orleans ydoedd, yn dod i'n

gyfarfod; agerfad arall, o'r ochr arall, am y cyntaf a redai tuag atom; a chyn pen dwy awr, yr oedd y ddwy yn ein hochr. Rhoisom raff fawr i un o'r ddwy, yr hon a'n tynodd, erbyn canol y dydd, i geg afon y Mississippi. Mawr oedd llawenydd pawb, a'u diolchgarwch, am gyrhaedd hyd yma. Y mae genym 100 milltir etto i'r ddinas. Cyrhaeddasom dydd Mawrth, y 17eg, oll yn iach. Yn fuan, cychwynwn oddi yma i fyny yr afon, i St. Louis.

Bellach, ar frys, ffarwelaf y tro hwn, gan fod arall fusnes yn fy ngalw. Saint anwyl, byddwch ffyddlawn i'r alwedigaeth nefol y'ch galwyd iddi, a brysiwch barotoi i ddod ar ein hol. Gwrandewch ar lais eich llywyddion; a'r Arglwydd a'ch bendithio, yw gweddi barhaus a dymuniad calon,

Eich brawd yn Efengyl Crist,

D. JONES.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH THOMAS JEREMY AT OLYGYDD "UDGORN SEION.

*Orleans Newydd*, *Ebrill* 18, 1849.

ANWYL FRAWD DAVIS,—

A FYDDWCH mor garedig â rhoddi benthyg eich 'Udgorn' i mi, i swnio ynddo am y waith gyntaf o wlad bell. Yr hyn ydwyf am wneuthur yn wybodus drwyddo, yn fwyaf neillduol, yw rhoddi hanes ein mordaith o Lynlleifiad hyd yma. Dydd Llun, y 26ain o Chwefror, tua dau o'r gloch prydnawn, dechreuasom ein mordaith; ac wrth fyned allan o'r Waterloo Dock, canasom Ffarwel y Saint. Ar yr amser hwnw, yr oedd ynof ryw deimladau rhyfedd iawn; ïe, mor rhyfedd, hyd nes yw yn waith rhy anhawdd i mi eu desgrifio ar bapyr ac inc. Cofiaf am wynebau siriol fy ffyddlawn frodyr, William Phillips o Ferthyr, Abel Evans, Eleaser Edwards, John Davies, David fy mrawd, a Daniel Evans, Felinfach, Ystrad, Ceredigion, pa rai a ddaethant o Gymru i'n hebrwng hyd y gallasent. O, mor hyfryd oedd y gyfeillach a gefais gan rai o'r brodyr hyn lawer pryd yn Nghymru. Byddai y dydd weithiau yn rhy fyr i ni ymddyddan am y pethau a berthynant i deyrnas Dduw; cymmerem y nos yn estyniad ato yn aml, a safai cwsg yn mhell oddiwrthym ni, tra byddai ereill yn ddigon esmwyth yn ei afael. Y pryd hwn deuai i'm meddwl pa bryd y cawn eu gweled etto? Dychymmygwn glywed rhywbeth yn ateb, na fyddwn ddim yn hir cyn eu gweled draw yn Seion; ac ar hyny ymwrolais.

Pan oeddym yn myned allan o'r porthladd, gwelais fy anwyl

frodyr yn dilyn ar ein hol gyda glan yr afon mor bell, feddyliaf, ag y gallasent, dychymmygaf fy mod yn eu clywed, gyda'r awel deneu, yn dywedyd, "O, Dad, gofala di am danynt hwy," tra yr adleisiem ninnau yn ol—

Duw Israel, cadw di hwynt-hwy
Yn mhlith gelynion lu,
Fel meibion taran ar y maes,
Nes concro'r gelyn du.

Wedi i ni fyned allan i'r môr tua 30 milltir, trodd yr agerddfadau fu yn ein hebrwng yn ol, gan ein gadael ninnau yn unig ar yr eigion mawr. Yr oedd y gwynt yn lled groes i ni y diwrnod cyntaf, ond yr hin yn hyfryd iawn.

Dydd Mawrth, daethom i olwg yr Iwerddon: ymddangosai y tir yn ddiffrwyth, a'r mynyddau yn uchel iawn; ond er hyny, yr oedd tai annedd i weled yn aml iawn yn ngodrau y mynyddoedd. Mercher a Iau canlynol, yr oedd y rhan fwyaf o honom yn lled ddrwg ein hwyl gan glefyd y mor; daliodd rhai o honom heb un clefyd. Yn y dyddiau hyny, yr oedd ein llywydd parchus, Capt. D. Jones, yn ofalus iawn am y cleifion. Dangosodd ei gariad tuag atom yn fawr iawn; yr oedd yn cerdded yn ol a blaen er hyd ein llong fawr, gan weini i'r rhai claf. Bu ef a'r brawd Daniel Daniel o Brechfa, ynghyd â William Jenkins o Gaerdyf, yn llafurus iawn, ynghyd â rhai ffyddlawn ereill, i wneuthur cawl dwfr (gruel) i ni. Dyma y bwyd mwyaf blasus o bob peth yr amser hwnw. Yr oedd yn well i sefyll yn ein cylla, na dim arall. Nid oeddwn i yn ymofyn halen nac ymenyn yn y cawl yr amser hwnw, na gallu bwyta bara gydag ef ychwaith. Yr un fath oedd fy anwyl wraig a'r plant; ni bu Mary, ein merch ieuengaf, yn glaf trwy ein holl fordaith, er bod amryw yn prophwydo, cyn ein dyfodiad o Gymru, y buasai hon yn sicr o farw ar y mor, o herwydd ei bod yn byw ar fronau ei mam; ond i'm Tad nefol byddo y diolch am ein cadw oll yn fyw. Ni pharhausom yn glaf ond am rai dyddiau; a gwelaf erbyn hyn bod y clefyd wedi gwneuthur lles i ni, trwy ei fod wedi puro ein cylla. Cynghoraf bawb a ddaw etto i Seion, i ddyfod â blawd ceirch, a bara ceirch, ganddynt; cânt brofi mai dyma y bwyd goreu pan y byddant yn glaf. Y ffordd oreu i'r rhai a ddaw etto ar ein hol tua Seion, gogyfer â'u hiechyd, fydd ymdrechu aros yn fynych ar y deck. Bydd hyn o gynghor yn fanteisiol iddynt, ar ein cost ni. Bu y brawd Jones yn ddiwyd iawn i gael rhai i'r deck; ymdrechai rhai i lechu yn y gwelyau, a threio cuddio rhagddo, tra yr elai heibio; nid pell oeddwn o fod felly fy hunan. Yr oedd weithiau, mewn joke, yn ein bwgwth y buasai yn tynu y pwll i lawr o'r deck, a gosod rhaff am danom, i'n tynu i'r làn erbyn ein gwaethaf; ond ufyddhaodd pawb i fyned i'r deck eu hunain, heb osod y joke uchod mewn gweithrediad. Cariad tuag atom a gymhellai y brawd Jones yn barhaus i'n llesoli yn mhob peth. Gwelwn oll ei werth yn ein plith oddiar pan ddechreuasom ein taith hyd yma; ac y mae yn ddiddadl genyf hefyd y gwna y brawd Jones ei oreu etto i'n llesoli

yn mhob peth, hyd nes cyrhaeddom ddyffryn y mynyddoedd; a chredaf hefyd, mai ei brif ymdrech yno fydd ein gwneyd ni yn hapus, ac i fwynhau bendithion tymmorol ac ysbrydol.

Anwyl frawd, gellwch gyhoeddi yn eich Udgorn soniarus, mai gau-brophwydi yw yr holl rai sydd wedi prophwydo o'r wasg a'r pwlpudau, y buasai y brawd Jones yn ein gwerthu yn gaethion, myned â'n harian, &c. Y mae yn amlwg iawn i mi a'r holl Saint i wybod pa ysbryd a'u harweiniodd i ddychymmygu y cyfryw bethau am dano.

Ond i ddychwelyd at hanes y fordaith. Ni pharhaodd nemawr o honom yn glaf wedi y diwrnodau cyntaf. Nid ydwyf yn bwriadu rhoddi hanes ein taith yn ddyddiol yn y llythyr hwn, fel ag yr oeddwn yn meddwl ar y cyntaf; o herwydd fod y brawd Jones yn rhoddi hanes ein taith yn fanwl yn ei lythyr ef. Digon i mi yw tystio ei fod ef wedi rhoddi yr hanes i lawr yn iawn. Y mae genyf ddydd-lyfr, yn yr hwn y gosodwn i lawr y pethau mwyaf hynod a welswn bob dydd, ynghyd â pha fath hin oeddem yn gael. Yr oeddem weithiau yn gweled pysgod gryn fawr, yn heidiau yn dilyn ein llong, ac yn neidio i'r lân ychydig yn uwch na'r dwfr; eu hyd oedd o bedair i bum troedfedd, a rhai yn fwy. Gelwid hwynt yn for-hwchod. Gwelsom hefyd y dolphin, yr hwn a godwyd gan un o'r morwyr i'r lân yn fyw; ystyrir hwn yr harddaf o holl bysg y mor; mae oddeutu maintioli salmons cyffredin Teifi. Gwelsom y flying-fish, ddegau o honynt; yr oeddynt yn ehedeg uwch y dwfr o un man i'r llall. Ar y 19eg o Fawrth, gwelsom bysgodyn oddeutu 12 troedfedd o hyd, yr hwn a alwai rhai yn shark, ac ereill yn forfil ieuanc. Llawer o longau ac ynysoedd a adawsem ar ol, a chyflymai ein llestr bob dydd tua machlud haul. Cawsom dywydd hyfryd a gwynt teg fynychaf bob dydd; mewn gwirionedd, yr oedd lawer yn fwy hyfryd arnom nag y meddyliais y byddai; yr oedd canol Mawrth fel canol Mehefin. Tra mewn un rhan o'r llong y chwareuai y cerddorion, byddid yn darllen llyfrau buddiol fan arall; ereill yn ymddyddan am ein cydgenedl anwyl—am lwyddiant yr efengyl yn eu plith—pa faint o'u perthynasau sydd wedi ufyddhau i'r gwirionedd. Mae fy ngweddi innau ar i'm perthynasau oll, a phawb trwy Gymru, yn enwedig y rhai hyny a'm clywsant yn pregethu yn siroedd Caerfyrddin ac Aberteifi, gael gafael ar y gwir oleuni. Bydded i'r had a hauais, i dyfu yn iraidd; diammau genyf ei fod wedi cael tir da mewn gwahanol fanau, ac y dwg ffrwyth. Gofaled fy mrodyr sydd ar ol am yr egin gwan, rhag i ddim eu dystrywio; a bydded iddynt hau yr unrhyw had mewn daear ffrwythlawn, fel y dygo ffrwyth lawer.

Cynnaliasom gyfarfodydd gweddio bob nos braidd, yn lle dyledswyddau teuluaidd. Tywalltodd ein Tad ei Ysbryd arnom o'r uchelder yn nerthol; atebodd ein gweddiau, hyd nes oedd yn peri i'r gwynt ufyddhau ar ein cais. Yr oeddem bob Sul yn cadw cyfarfodydd Saint, yn goffadwriaeth am ein Harglwydd bendigedig; weithiau yn y cyfarfodydd hyn, caem wybodaeth trwy yr Ysbryd am danoch chwi yna yn Nghymru; do, dadguddiodd i ni bethau mawr; ac O, mor felys oedd y ddysgeidiaeth a gyfranai y brawd

Jones i' ni, e barthed i adgyfodiad y meirw—sef, "Pa fodd eu cyfodir, ac â pha rhyw gorff y deuant?" Mae mwy o ddirgelwch yn hyn nag y meddylia rhai.

Gwelaf fod fy llythyr yn myned yn faith; rhaid tynu at y terfyn, er mor flasus yw genyf roddi hanes ein mordaith hyfryd; ond, cyn terfynu, dymunaf hysbysu fy mrodyr a'm chwiorydd anwyl, pa rai sydd yn bwriadu ein dilyn etto tua Seion, am ofalu bod yn ufydd i'w llywyddion mewn pob cynghor a gânt ganddynt o bryd i bryd, ac felly cant lawenydd mawr yn yr Ysbryd Glân: o'r ochr arall, os anghofiant y cynghor hwn, a diystyru yr offeiriadaeth santaidd, gwell i'r cyfryw aros ar ol, hyd nes y deuant yn feddiannol ar ddigon o Ysbryd Duw, i fod yn ostyngedig, addfwyn, boneddigaidd, ac hawdd eu trin.

Anwyl frodyr a chwiorydd, brysiwch i ddyfod ar ein hol, gan gofio cadw y cynghorion uchod yn eich cof, a chofio ddywedyd o Iesu Grist mai gwyn eu byd y rhai addfwyn, canys hwy a etifeddant y ddaear.

Yn awr, anwyl frawd Davis, wedi bod mor faith, terfynaf, gan eich hysbysu ein bod wedi cyrhaedd yma yn iach. Mae fy ngwraig yn cyduno â mi i'n cofio atoch yn garedig, gan ddymuno pob daioni i chwi.

Eich anwyl frawd yn Nghrist,

THOMAS JEREMY.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

